# YMDDYDDAN

RHWNG

## Y PARCHEDIG A'R BACHGENYN.

---

P. Tyr'd yma, Wil—rho glywed im'; wyt ti yn un o'r Saint?
A hudwyd ti i gredu twyll o'r fath anfeithol faint?
B. Y gwir raid ddweyd, Barchedig Syr; o'r Saint 'rwy'n gwneuthur un,
A hyn am fod eu crefydd hwy o drefniad Crist ei hun.

P. Beth ŵyr rhyw hogyn bach fel ti, am grefydd Iesu Grist?
Mae'r Saint, yn siwr, yn myn'd â thi ar frys i uffern drist.
B. Mae'n wir na wn ond 'chydig iawn; ond gwn fod Crist yn fyw,
A bod ei eiriau oll yn wir: ce's wybod hyn gan Dduw.

P. Mae'n oes rhy oleu 'nawr i neb, i gredu peth mor ffol;
'Roedd Duw yn rhoddi gwybod *gynt*, ond tynodd hyny 'nol.
B. Mae'n rhoddi gwybod *'nawr*, yn siwr; 'rwy'n dyst fod Duw yr un:
Pwy bynag wna'i ewyllys Ef, caiff wybod hyn ei hun.

P. O, taw, paid cellwair, blentyn ffol; 'rwyt yn rhyfygu 'nawr.
A wyddost ti yn well nag un sy'n was i'r Iesu mawr?
B. 'Rych chwi yn hyddysg, Syr, mi wn, ac un o uchel ach;
Ond rhaid eich gwneyd, cyn gwybod dim, fel un sy'n blentyn bach.

P. Ai'r Saint a'th ddysgant di fel hyn, i gabln gwas i Dduw?
Da blentyn, gad y tylwyth cas, sydd ar eu twyll yn byw.
B. At bwy yr af i ddysgu'n well orch'mynion Crist digoll;
'Rych chwi a'ch plaid yn dweyd yn hyf, nad y'nt i'w dysgu oll.

P. Na chreda ddim a dd'wed y Saint—gan bawb d'ystyrir hwy:
Dos at ryw enwad parchus, grwt; na chymmer d'erlid mwy.
B. Pob rhai sy'n arddel crefydd gau, a berchir gan y byd;
Ond d'wedodd Crist am danom ni, mai'n herlid gaem o hyd.

P. Paid colli'th enaid, blentyn mwyn, wrth ddilyn sect mor ffol:—
Mi'th ddodaf mewn sefyllfa wych os gwnai di droi yn ol.
B. Fe dd'wedodd Crist mai gwae y sawl a rwystrai un fel fi;
Gwell fyddai 'i glymu ef wrth faen, a'i soddi yn y lli.

P. Y Satan bach!—'Rwy'n myn'd o'th ŵydd, ni phoenaf wrthyt mwy;
Gwna gredu'r Saint, a dos mewn twyll i uffern gyda hwy.
B. Y temtiwr aeth—ac, O, fy Nhad, yr hwn wyt yn y nef,
'Rwy'n diolch it am roddi nerth, i'w lwyr orchfygu ef.

J. Davis.

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, GEORGETOWN, MERTHYR.